E. L. Parry

Y Marw wedi ei chodi yn fyw

Atebydd

Anerchiad

Beth ydyw yr Efengyl

Beth yw Mormoniaeth

Y Gloriau

Gau Brophwydi

Hanau

Cwcw y Don

Amddiffyniad y Saint

Adolygiad -

# Y FARW WEDI EI CHYFODI YN FYW:

NEU'R

# HEN GREFYDD NEWYDD.

# TRAETHAWD

YN DANGOS

## ANGHYFNEWIDIOLDEB TEYRNAS DDUW.

**GAN CAPT. D. JONES.**

---

"CANYS MYFI YR ARGLWYDD NI'M NEWIDIA," &c.—Malachi.

"A rhai yn wir a osododd Duw yn yr Eglwys; yn gyntaf APOSTOLION, yn ail PROPHWYDI, yn drydydd athrawon, yna GWYRTHIAU: wedi hynny DONIAU I IACHAU, cynorthwyau, llywodraethau, RHYWIOGAETHAU TAFODAU."—Paul.

"Eithr pe bai i ni, neu i Angel o'r nef Efengylu i chwi amgen, na'r hyn a Efengylasom i chwi bydded ANATHEMA."—Paul etto.

"Ac efe (Crist) a esgynodd i'r uchelder ac a roddes roddion i ddynion."

"Ac EFE a roddes rai yn APOSTOLION, a rhai yn BROFFWYDI," &c.—Paul fyth.

"Dymunaf ar bob Cymro a wêl y traethodyn hwn ei ddarllen yn bwyllog a diduedd, ai farnu (nid cyn ond WEDI ei gymharu) wrth y Gyfraith a'r dystiolaeth, wrth yr hon y bernir ni oll cyn hir; ond ni foddlonaf, i Dduwinyddion y byd eistedd mewn barn arnaf, am na osodwyd hwy yn farnwyr."—YR AWDWR.

"Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda."—medd Paul.

"Y neb a attebo beth CYN EI GLYWED, ffolineb a chywilydd fydd iddo."—Solomon,

---

**TRAETHAWD, Rhif. 1af.**

---

GWRECSAM:

ARGRAFFWYD GAN WILLIAM BAYLEY, HEOL-ESTYN.

1845.

# RHAGYMADRODD.

Un o wrthrychau godidoccaf y bŷd, ïe, prif addurn y greadigaeth, yw, *Meddwl annibynol,* rhôdd y *nef* yw hon i *ddynion,* a'r hynottaf o'i holl roddion : yr hwn ni feiddia feddwl drosto ei hun, nid yw ddynol, a'r hwn nad ymddwyn yn gyferbyniol, iw'r rhagrithiwr gwaethaf o'r hîl ddynol! Ychydig, mewn cydmariaeth sydd yn meddu ar yr anian auraidd hon, am nad ydynt yn gwybod ei gwerth; ond yr wyf fi, er yr unig UN o hîl Gomer ar a welais yn y wlad) yn honi fy hawl, nid yn unig i gredu, ond hefyd i amlygu yr athrawiaeth a osodir allan yn y traethawd hwn, ïe mae'n ddyledswydd arbenig arnaf gyhoeddi 'r hyn a gredaf yn wirioneddau dwyfol; pêd esgeuluswn hyny ni byddwn ddieuog ger bron fy marnwr. GWIRIONEDD yw'm cleddyf, a gŵn, mae'r, HWN YDWYF." Sy'n cynal fy neheulaw: ei waith Ef yw, am hyny nid ofnaf beth a wnêl dyn i mi!

EI AIR EF, yw'r unig reol anffaeledig a hyny heb un esponiad *ffaeledig* arno." A dymunaf ar y darllenydd, gydmaru, yn onest, a diduedd y pethau hyn, (nid wrth Gyffes yr hên dadau,) ond wrth y Gyfraith ar dystiolaeth, oni ddywedant yn ôl y gair hwn, hynny sydd am nad oes oleuni ynddynt. Pa un a ydyw y pethau hyn felly ? Sydd holiad pwysig iawn, ac a ddylai gael ei atteb, nid *wedi* ond *cyn* eu cymharu a'r drych cywir; canys y neb a attebo beth cyn ei glywed ffolineb a chywilydd fydd iddo." medd Sol. Dywed Paul, "Profwch pob peth, deliwch yr hyn sydd dda," Na fydded i neb ddyfod i benderfyniad byrbwyll am yr athrawiaeth hon, o herwydd ei bod yn ymddangos yn *newydd* a *dieithr*, canys yr hynaf un o bob athrawiaeth yw; a sicr yw na bydd ddieithr i neb yn yr ail-fyd, os bydd yn hwn.

Cyfrifaf yr hwn a'i *prawf* yn anysgrythyrol, (mewn yspryd addas,) yn *ffrund* penaf, ïe yn wladgarwr dâ; a rhwymaf fy hun i alw y cyfeiliornad yn ol, (wedi ei BROFI felly, y Bibl yn unig, fel mae'n ysgrifenedig, yn rheol) yn y modd mwyaf cyhoeddus. Ond, o'r ochr arall, os condemnia neb ef cyn ei chwilio, gan roddi rhwystrau ar ei ffordd, efe a brawf ei hun yn annoeth ac annhêg, yn wrthwynebwr y gwirionedd; ie yn elyn yw genedl ei hun; a bydded Solomon yn farnwr arno.

Na farner yr athrawiaeth hon yn ôl yr ystoriau disail, a'r mil ond un o chwedlau celwyddog, sydd eisoes wedi gorlifo'r wlad yn erbyn yr enw hwn; canys gallaf *brofi pob* un a glywais etto, yn gelwyddog a disail; a rhoddi hollol foddlonrwydd i bob dyn, a addef un math o brawf.

Ni wna un dyn egwyddorol feio ar fy iaith, os nad yw mor ramadegol; oherwydd na fuom ymhlith Cymry nemawr er yn fachgen; ond wedi bod er's dros ddeunaw mlynedd, bron o hyd, ymysg iethoedd ereill, lle na chlyw'n air o honi; yn enwedig am y saith mlynedd diweddaf, ni sŵniodd un Cymro dyrtyr fwyn fy ngwlad am awr yn fy nglyst; ac ni allai dim llai na chariad at fy ngwlad, a dymuniad mawr i'm cyd-genedl gael y gwir; ie fel y mae yn yr Iesu, fy nghymell, dan y fath anfanteision; i gynyg iddynt yr egwyddorion hyn, gan wybod eu bod yn wahanol i bob athrawiaeth sydd yn y wlad! Ond gwell genyf anturio ar fy nyledswydd, ar gost pob peth, hyd yn nod enw da (yr hwn a gyfrifaf yn well nac aur coeth lawer) ie, os bydd raid rhoddi bywyd hefyd yn offrwm gwirfoddol dros y gwirionedd, nac anturio ar gost cydwybod effro i ŵyddfod ei hawdwr, i gyfarfod un Cymro, wedi celu y pethau hyn oddiwrtho!!

Gwrecsam, Ebrill 4, 1845.

# ADOLYGIAD

AR

# DDARLITH OLAF

## Y PARCH. E. ROBERTS, RYMNI,

YN ERBYN "MORMONIAETH."



Yn ol yr hysbysiad blaenorol, ymddangosodd y gwr uchod yn areithfa y Capel Isaf (Bedyddwyr), Merthyr, nos Fawrth, yr ail o fis Tachwedd. Yr oeddym wedi anfon iddo yr *Adolygiad* ar ei ddarlithoedd yn Dowlais, fel y caffai y fantais o weled ei gamsyniadau. Hwn oedd y peth cyntaf a ddaeth dan sylw yr areithydd, ac heb gydnabod fod ynddo un rhinwedd na defnyddioldeb, condemniodd ef yn grynswth! Yr oedd yn rhy lawn o wallau i ddechreu ei adolygu, ebe efe; a rhoddodd i ni ddwy enghraifft o hyny, sef, 1, Oherwydd cyfarch y darllenydd gyda'r gair "*cewch* yma," yn lle *cei* yma! Onid ystyriasai efe hyny yn sarhad arno ef, pe cyfarchesid ef gyda *tydi* yn lle *chwychwi?* 2. Oherwydd y sonia y llyfr am y gair "dadl," pan, ebe efe, nid oedd dadl yn bod, na alwodd efe arnom i ddadl. Ac ar yr un pryd daliai yr ochr arall i'r ddadl yn ei law, sef yr Adolygiad. "Cewch yma," se : yn y llyfr, oedd y frawddeg. Dyma'r cwbl o enghreifftiau a welodd yn dda ddyfynu o lyfr a gynnwysai deugain o dudalenau, cyn ei gondemnio yn hollol. Ond y peth a'n synodd fwyaf oedd, fod Mr. R. yn ei gyhuddo o flagardiaeth! Ac o'i fod yn rhoi y celwydd i'w wyneb ef yn rhy aml; "na ddylid rhoi celwydd i'r naill a'r llall," ac â'r anadl nesaf, gwaeddodd nerth ei ben, "Yr wyf fi yn dweyd fod hwn yn Adolygiad celwyddog!" Anhawdd yw dwyn dyn o'i arferiad gynsefin, onide? Efe ei hun a'i dystion oedd yn profi y celwydd i'w wyneb ef, ac nid y llyfr. "Ei wefusau ei hun a dystiolaethent yn ei erbyn." Ond y syndod oedd, meddwn, fod dyn ag oedd wedi chwilio i waelodion yr iaith, wedi tori dros ei therfynau, a benthyca o ieithoedd ereill enwau drwg i roi arnom ni—y dyn a'n galwai yn *Necromancers, witchns, hudoledigion anwybodus*, gwaeth nag inffideliaid, baboons, monkeys, a llawer o enwau rhy flagardaidd genym eu henwi; ie, y dyn hwn ag

sydd mor wyn, mor lân, ac mor santaidd, a boneddig, yn awr, â'n condemnio ni am arferyd gair mor hagar a "celwydd!" Clywsom am gyhuddwr y brodyr yn ymrithio yn rhith angel y goleuni cyn y tro hwn. Os mynir gwybod pwy yw'r blagard, darllener gohebiaethau ein cyhuddwr *boneddig* hwn yn *Seren Gomer* am Tachwedd. Yno ceir enghreifftiau o'i foneddigeiddrwydd hònedig ef, wedi ei ysgrifenu, cofier, yn bwrpasol i gael ei gyhoeddi mewn cyhoeddiad crefyddol yn "yr oes oleu hon," ïe, gan un a broffesa y titl o Efengylwr duwiolfrydig! Craffer ar frawddegau boneddigaidd ein cyhuddwr; dyma hwy—"Y twyllwyr ofergoelus a hudoliaetqus hyn," sef nyni, siwr, ei gydddynion! Etto sylwer, "Dyma y tylwyth mwyaf anwybodus, digywilydd, ofergoelus, a chythreulig [os nad blagardio yw hyn, hawyr bach, beth yw blagardio ?], a ymrithiasant i fodoliaeth erioed dan fantell crefydd; y mae yn ormod o *gompliment* i'r diawl o'r bron ymyraeth llawer â hwynthwy, mewn ffordd o areithio ac ysgrifenu," ebe y dyn a'n cyhudda o flagardiaeth!

Yn awr, gwelir mai "putain sy'n gwaeddi putain gyntaf;" ae felly yma. Os gall rhywun, o rywle, ïe, hyd yn nod Mr. Davies ei hun, guro y flagardiaeth uchod, teilynga y cap yn ol oddiar ben ein cyhuddwr yn siwr. O'n rhan ni, rhown ni y goreu iddo yn y fusnes hon yn rhwydd, a da genym ei fod yntau yn ddigon gonest i addef mai talu compliment i'r diafol y mae efe wrth blagardio ac erlid plant Duw! Pwy arall a geisiodd genych ei wasanaethu ef mor selog? Gallasech beidio gwneyd ei arch ef heb golledu neb. Gwarthus iawn fydd i chwi barhau i wasanaethu y diafol fel hyn drwy'r wythnos, ac hefyd godi tâl am wasanaethu Duw ar y Sul? Ni ellwch chwithau, er eich rhwysg, wasanaethu dau Arglwydd fel yna yn hwy nag y bydd y cyhoedd yn dod i ddeall eich trics, ac efallai yn tynu eu *purse strings* yn dynach y ffordd hono wed'yn. Ac ow, beth a gewch wed'yn? Dychymmygaf eich clywed yn llefain fel hwnw gynt,—"Gweithio nis gallaf, a chardota sydd gywilydd genyf." "Ystranciau," aïe? "Swynwyr twylledig," yw eich cymmydogion crefyddol, aïe, pa rai yr addefasoch eu bod yn proffesu y Testament Newydd a'r Hen? Ond digon bellach i arddangos mai penaf blagard yw yr hwn a waedda blagard ar y dieuog.

Dywedodd y darlithiwr hefyd ei fod ef wedi ysgrifenu y darlithoedd a draddododd yn Dowlais, ac mai yr un peth air yn air a geid glywed yn ei ddarlith olaf hon; a gofynai i bawb graffu mai celwyddau yw y cyfan o'r Adolygiad ag a wahaniaethai oddiwrth y ddarlith hon. Felly craffasom ninnau ar hon, gan ei hysgrifenu fel yr ysgrifenasom y lleill; a chan mai yr un pethau "air yn air" a addawai heno; a chan i ni adolygu ei ddarlithoedd hyny mor fanwl yn yr Adolygiad, nid ymdrafferthwn yma lawer ond i ddangos ei fod ef, fel y mae y pryf copyn pan mewn gormod brys am ei ysglyfaeth, yn gwau ei rwyd ei hun am dano fel na allo syflyd. Neu roddi ychwaneg o enghreifftiau i ddangos mai po fwyaf a winga ein herlidiwr i ddyfod allan o'r mwd, dyfnaf byth y sudda iddo. Yr oeddym wedi rhagdybio mai gwadu yr haeriadau hyny a'i llyffetheiriai dynaf pan y deuent i'w wyneb; rhag hyn, gan ddysgwyl gweled ei ddarlithoedd, a'i *home stroke*, mewn du a gwyn, yr oedasom gyhoeddi yr Adolygiad cyhyd; ond dysgwyliasom

yn ofer, canys yr oedd efe wedi "*smelio y rat.*" Triniasom y boneddwr yn bur dirion ar y cyntaf, oherwydd y meddyliem y gallasai fod mor ffol â chredu ei ddarlithoedd ei hun, ac o ganlyniad y gallasai fod yn gydwybodol yn erlid plant Duw yn ei anwybodaeth fel Saul gynt; ond erbyn hyn cafwyd ffeithiau digonol yn ngwrthodiad pendant y dyn o wirionedd, a'i ystyfnigrwydd yn parhau i haeru camgyhuddiadau gwybodus mor haerllug, i brofi nad Saul gydwybodol oedd dan ein ewinedd, namyn Nero greulon hyd gyrhaeddiad ei ewinedd yntau. Gan hyny dyfynwn ychydig o'r llawer o wahaniaeth oedd rhwng y ddarlith olaf hon â darlithoedd Dowlais, serch iddo ef addaw y byddai yr un peth. A chan eu bod yn ysgrifenedig, os na ddaw "air am air," nid ellir esgusodi ei ddyben yn gwahaniaethu, trwy ddywedyd mai ar ei gof yr oedd y bai.

Ni ynganodd air yma, fel y gwnaeth yn Dowlais, 1, "Fod Cristionogaeth yn anghyfnewidiol:" gwel Adol. tud. 5. Ni soniodd yn 2, "O bob eithafion, yr eithafion mewn crefydd yw y gwaethaf:" gwel Adol. tud. 6. Dysgodd well erbyn hyn na gwaeddi, 3, "Peidiwch a'u gwrando:" gwel Adol. tud. 7, Cyweiriodd ei wely serch hyny yn meddyliau ei wrandawwyr drwy adrodd am y twyllwyr a fu yn y canrifoedd mynedol, ond gwadodd nad oedd efe yn dweyd fod beichiogiad honedig Anne Lee, neu Johana Southcoat, o'r Ysbryd Glân yn enghraifft o Joe Smith! ond profai hyny, ebe efe, nad peth newydd yw hòni gwyrthiau a dadguddiadau! Eithr ni fuasai raid iddo chwilio hanesion dynion drwg i brofi y gosodiad yna, canys gallasai brofi yn gadarnach fyth o'r Beibl, pe meiddiasai ddod i'r maes dan *flying colours,* mai peth hen iawn yw proffesu gwyrthiau a dadguddiadau!! Felly gweler mai dyben y gwr yn nodi yr enghreifftiau hyny oedd i brofi mai twyll a chyfeiliornad gwarthus yw hòni gwyrthiau a dadguddiadau yn mhob oes, neu o leiaf, dyma a brofa ei resymeg, nad beth a feddyliai efe! Ac onid cofus i ni brofi o'r blaen mai deist trwyadl yw y dyn o galon? a pha brawf ychwaneg sy'n eisieu na'i resymeg ei hun? Haerodd a gwadodd droion fod, ac nad oedd, y rhai cyfeiriedig yn enghreifftiau o "Joe Smith." Dysgodd well erbyn hyn nag ynganu gair am 4, "Compass y Morwr, &c." gwel Adol. tud. 14. Dim gair am 5, yr "Alpha ac Omega:" Adol. tud. 13. Ond rhy faith fyddai nodi yr holl wahaniacth oedd rhwng y darlithoedd â'u gilydd. Digon yw hyna i ddangos pa mor wirioneddol y gall efe ddarllen ei ysgrifen ei hun.

Yn nesaf, gwelir ei wyrgamrwydd hanesyddol fel y canlyn:—Dyfynodd lawer o hanes gelynion proffesedig i brofi tarddiad, cyfieithiad, a chynnwysiad, Llyfr Mormon, ynghyd â chymmeriad ei gyfieithydd, &c., gan haeru uwch eu penau mai hanes y Mormoniaid eu hunain oeddynt, ac unwaith dyfynodd ychydig o hanes J. Smith ei hun: a syndod mawr os oedd yno undyn mor ddall a'r na welai y gwahaniaeth rhwng hwnw a'r lleill! Dywedai y lleill fod Joe Smith yn grwydryn, gwallgofddyn, yn cloddio am arian, Necromancer, &c., a darfod iddo gyfieithu llyfr Mormon drwy offerynoliaeth "*peep stone,*" a'i ben mewn het, a blankets rhyngddo â'i ysgrifenydd, &c. Ac etto haerai ein darlithiwr yn ben uchel mai hanes y Mormoniaid eu hunain oedd hyn, pan ar yr un pryd mae'n ddidadl y gwyddai efe ei hun, ac

yr oedd yn ddigon amlwg i bawb oddiwrth yr hyn a ddarllenodd ar y pryd o hanes y Saint eu hunain, pe dim arall, mai haeriadau eu gelynion oedd y lleill. Os y Mormoniaid a gyhoeddodd y pethau hyny, pa le y cyhoeddwyd hwynt? pa lyfr, gwlad, neu amser? Etto, meddwn, os y Mormoniaid a ddywedasant fod y ddwy gareg hyny yn meddiant Joe am flynyddau, ac yr edrychai drwyddynt i'r ddaear am drysorau; ac os hwy a ddywedant eu bod yn y gist gareg ar yr un pryd, fel yr haera ein darlithydd, yn enw rheswm, paham na ddygai yr hanes hwnw yn mlaen, ac enwi y tyst, ei ysgrif, y tudalen, &c.? Y mae genym hawl i ofyn am gymmaint â hyna o brofion o'i haeriadau, bid siwr, er cymmaint yw ei anffaeledigrwydd; ac er gofyn o'r blaen am brofion, nid oes i'w gael ond haeriadau fyth, "mai hanes y Mormonyw." Tebyg yw y ffugio ein hanes hyn i'r ffugio ein cymmeriad gyd â'r Anerchiad gwarthus hwnw ar ein henwad yn y *Seren Gomer* am Tachwedd, a bloeddia y ddwy ysgrif "Fy nhad, fy nhad," yn ngwyneb yr un gwr. Ond gwadwn ni mai hanes y Mormoniaid a ddywed y pethau uchod, a pharhawn i wadu hyd oni cheir prawf i'r gwrthwyneb, yr hyn ni cheir byth. Os yw hanesyddieeth y Mormoniaid mor felys gan y gwr hwn, paham dweyd o'i bwlpud yn Dowlais, mai LLYFR YN DANGOS DIAWLEDIGRWYDD JOE, yw ein llyfr hanesyddol? Ond i ddod yn nes etto. Gofynwn beth oedd yr hanes gwirioneddol am awdwr a tharddiad yr un llyfr Mormon yn Dowlais gan yr un dyn? O, sicrhäai yno ar sail dim llai na llw gweddw a merch dduwiol y parchedig dduwiol, sef Mr. S. Spaulding, mai efe oedd gwir awdwr y llyfr hwnw ag y dywed yr un darlithydd wrth ddarllen yr un ysgrif "air am air" yn Merthyr mai "Joe Smith oedd ei awdwr!" Darllenai yr un awdwr o'r un ysgrif yn Dowlais, mai yn New Salem, talaeth Massachussetts, y cyfansoddwyd Llyfr Mormon. Yn Merthyr darllenai o'r un ysgrif "air am air," mai yn agos i dref Manchester, y cwr gorllewinol i dalaeth Caerefrog Newydd y cafwyd yr un llyfr, er fod tua 1000 o filldiroedd rhwng y manau â'u gilydd! Yn Dowlais, darllenai o'r un ysgrif mai yn y flwyddyn 1812 y cyfansoddwyd y llyfr Mormon. Yn Merthyr, profodd yn ddiwrthbrawf drwy ddarllen yr un ysgrif "air am air," mai yn y flwyddyn 1827, neu 1830. y cyfansoddwyd ef! Ysgrif go ryfedd oedd hono, onide? Ie, meddyliwn mai dyma y gwr sy'n meddu y *peep stone*, neu y peep ysgrif dryloew yn hytrach! Yn siwr, rhyw ysgrif wyrthiol yw eiddo ein darlithydd, os dywed air am air yn y llall, ac etto mor hollol groes o barthed i'r un peth! Gwelir yma na ellir cymmodi ysgrif wyrthiol y gwadwr a'r gwawdiwr gwyrthiau hwn â hi ei hunan, nac â'i hawdwr, hyd oni phrofa efe mai yr un person yw Joe Smith a Solomon Spaulding—hyd oni chipia ddinas New Salem o dan ei aden wyrthiol, a'i chario tua mil o filldiroedd i'r gorllewin, a'i hunaniaethu a'r manau ereill a nodwyd—hyd nes y profa ei *logic* i ni mai yr un amseryddiad yw 1812, a 1827, neu 1830! Er mor wyrthiol fyddai y pethau hyn, rhaid i Mr. R. naill ai eu cyflawni yn llythyrenol oll, cyn y gwiria ei haeriad, sef "y rhoddai yr un ddarlith air am air ag yn Dowlais," neu addef nad "mor air am air" y darllenodd ei ysgrif yn y ddau fan. Os gwna y blaenaf, sef y gwyrthiol, rhown ni i fyny iddo yn foneddig, canys nid ydym ni yn proffesu y fath allu gwyrthiol â hyna. Etto, os na wna hyna, rhaid

iddo addef ei fod ef wrth geisio rhoi y celwydd i'n hadolygiad wedi cloddio ffos, a chael ei gwympo iddi ei hunan; ïe, rhaid iddo addef mai efe yw'r anwireddwr cyhoeddus! Aroswch i fyny yn foneddig y tro hwn ynte, gyfaill? Os gwnewch, wele ni ar lan y ffos yn barod i estyn llaw i'ch helpu i'r lan o'r mwd yna etto, er brynted yw. Dewch, dewch, peidiwch bod yn ystyfnig yn hwy: nid yw hyny un mymryn o les i chwi, coeliwch. Gwnewch a dywedwch a fynoch yn erbyn Mormoniaeth, fe'ch llorir yn mhob cynnyg cyn sicred a'ch bod yn gwingo yn erbyn symbylau dwyfol. Er eich mwyn eich hun dywedwn, gadewch eich "ceffyl a'r botasau yn y mwd," ac achubwch eich bywyd eich hun ar gost pob peth, beth bynag Peth draenog iawn yw'r Formoniaeth yma i'r cwn fo am ei llarpio, onide, Mr. Roberts? A chlywir aml un yn lleisio pan yn dianc ymaith i'r North a'u cegau yn gwaedu oherwydd ei gwasgu hi dipyn rhy galed a byrbwyll, nes yr aeth ei phigau bob ffordd hyd y quick! Ond os gwneir chwareu teg â hi, y mae yn un o'r pethau *rhadlonaf*, *boneddigeiddiaf*, a *hyfrydaf*, ag a welsoch erioed. Nid Mormoniaeth, ond rhyw "fwgaiod gwynion o liw arall," yw y rhai a ddirdynwch chwi mor gampus. "*You have awoke the wrong passenger, Syr.*" Beth oedd yr achos o ddifrif Mr. Roberts (dywedwch y gwir am unwaith), i chwi fod mor fud am y *Spaulding Story* yn Merthyr? Dim gair, na *hew* na *mew* nid ynganasoch am beth mor bwysig, a pheth ag oedd yn dal y fath gyssylltiad â, ïe yn begwn a gwreiddyn gwirioneddol eich hanes am lyfr Mormon, ebe chwi yn Dowlais!

Ond beth a wnawn ni yn dilyn y dyn mor fanwl, ac yn ymdrafferthu i wrthbrofi ei gyhuddiadau, pan nad yw efe yn eu credu ei hun. O nac ydyw; nid yw efe yn gwybod mai twyll yw Mormoniaeth—mai gwallgofddyn oedd J. Smith—mai athrawiaeth gythreulig yw, na dim arall, serch iddo haeru hyny: canys (clywch bobl!) dyweda Mr. R. ar gyhoedd yn hyf y bydd efe yn Formoniad ei hunan yn y fan os caiff weled un, ïe, dim ond un wyrth fechan! Wel, dyma addefiad naill ai nad yw efe yn credu fod ein crefydd mor gythreulig ag y desgrifiodd efe hi, neu yr ymwertha efe i'r cythraul er boddio ei lygaid! Dyma addefiad hefyd na wyr efe gwas i bwy ydyw efe ei hun yn awr, na phwy yw y rhai a erlidia mor selog! Dengys yr ysgrythyr i ni y gwna gweision y diafol wyrthiau a rhyfeddodau mawrion, ac a dwyllant lawer, ïe, hyd yn nod i beri i dân ddyfod i lawr o'r nefoedd yn ngolwg dynion. Y rhai hyny, ac nid gweision Duw, a broselytiant Mr. Roberts a'i gyffelyb gyntaf o lawer, canys bydd efe yn rhwym, yn ol ei resymeg ei hun, o gredu a chanlyn y rhai hyny a wnant wyrthiau iddo, nad beth fydd eu proffes, eu hegwyddorion, pwy fydd eu Duw, a pheth fydd eu Beibl, na pha le y bydd eu tynghed! Yr eiddynt hwy raid fod yr eiddo yntau, druan, eu pobl hwy ei bobl ef, eu Duw hwy ei Dduw ef, ac fel y gwnant hwy y gwnaiff yntau, a'u huffern hwy fydd ei uffern yntau, ond yn unig iddo gael gwyrth fach!!

Chwi Fedyddwyr, y rhai a honwch grefydd Crist, ai dyma'r fath fugail sydd arnoch chwi? Beth! arweinia hwn ei holl braidd i gorlan y bleiddiaid, ebe efe, pan y delo y gaubrophwydi hyny a wnant wyrthiau! O ffolineb! Ai iaith gwas i Dduw yw hyn? Ai ymddygiad bugail da, ynte blaidd, yw hyn? Pa le ceir hanes am was honedig

i Dduw yn gwadu gwyrthiau, ac ar yr un pryd yn galw ar y rhai a eilw efe yn weision i'r diafol, am iddynt wneyd un wyrth fach o flaen ei lygaid ef, gan addaw, os gwnant, y gwrthoda efe ei holl grefydd flaenorol, ac y canlyna efe hwy? Yr oedd ei haeriadau braidd yn rhy wael a gwarthus i sylwi arni lawer cyn yn awr; dyma efe yn gosod ei hun a'i holl grefydd ar actiwn, fel y gosodir y Negro truan i'r uchaf ei geiniog. Y mae trueni dros y du, druan, oherwydd nad eill efe wrth ei gacthiwed: cael ei orfodi y mae; ond am y gwyn hwn, gosod ei hun i fyny ar actiwn y mae efe yn wirfoddol! ïe, cynnyg gwerthu enaid a chorff i'r sawl a wnelo wyrth fach iddo gyntaf! Wel, wyddys ai Duw ai diafol ai pryna: ac ni wyr yntau ei hun etto, canys yr hwn a ddelo a'i wyrth gyntaf a'i caiff, ebe efe ar ei wir! A chan na ellir ei gael ond ar ammodau gwyrthiol, sicr yw na chawn ni byth mohono, canys ni ddysgwyliwn byth gyrhaedd ddigon galluog i'w brynu o honom ein hunain; ac os pryna Duw ef y ffordd yna, bydd mwy o waith naddu a thremio arno nag a ddymunem ni gael gydag ef; canys mynai efe rodio (nid wrth ffydd, fel y dywed Paul), ond wrth olwg; a phan gollai ei olwg fel na allai weled gwyrth, collai ei grefydd a'i fywyd yn y fan. Ow! dyma'r fath ddyn yr ymdrafodwn ag ef! Druan o hono; y mae trueni calon arnom drosto, a thros y rhai a gymmerant eu dallu ganddo; ac yn awr, gadawn iddo soakio yn y mwd yna dipyn yn hwy, gan iddo wrthod ein help i ddyfod allan, ac efallai y bydd Mr. R. mor dirion a'n hysbysu os caiff ei bris gofynol am dano ei hun, a pha un ai Duw ai y diafol a'i prynodd!

Weithian, ddarllenydd hynaws, cynnygiwn i chwi ffordd ragorach, gywirach, a sicrach o lawer i roddi terfyn ar y ddadl, ai gwir yw Mormoniaeth ai nade; ffordd, meddwn, na eill ein gwrthwynebwyr ei chynnyg i neb. Dyma yw mewn gwir. A oes eisieu gwybod ai dyn duwiol oedd Joseph Smith. Ac a fynwch chwi gael gwybodaeth sicr ai efengyl Mab Duw yn ei nerth sydd gan y Mormoniaid? Wel, ufyddhewch i'w hammodau o galon gywir, ac yna profa Duw, drwy gyfranu i chwi eich hun brawfiadau dwyfol o hyny trwy ei Ysbryd Glân, yn ol addewidion Iesu Grist, mai gwirionedd yw darfod i Dduw, ïe, drwy un mor wael a Joseph Smith gyfranu i ni oruchwyliaeth ei efengyl. Nid ystyriwn ni yn gymmaint o bwys beth a gredir am J. Smith, nac am neb personau, ond cael gan ddynion ufyddhau i efengyl Mab Duw, canys *Iesu Grist*, ac nid *Joseph Smith*, yw yr hwn a bregethir yn ein mysg ni. Os na phrofa Duw i'r sawl a ufyddhao i'r drefn hon mai ei was ef oedd J. Smith, nid ymdrafferthwn ni i'w perswadio i goelio hyny; gwnant yr hyn a ddewisant. O'r ochr arall, wedi y profo Duw hyny iddynt ni cheisir profion o hyny genym ni. Dyma ffordd o foddio bob dyn gonest yn awr yn well na gwaeddi, "chwi dwyllwyr, gwnewch i ni wyrthiau, &c." Ie, dyma fel y dywedai ein meistr doeth o'n blaen, "Os ewyllysia neb *wneuthur* ewyllys fy Nhad, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth [Formonaidd] ai o Dduw y mae." Galluogir pob un fel hyn i ddyfod i benderfyniad sicr, a'i gwir ynte celwydd a ddarlithir i'n herbyn; ceir siwr, fel hyn ceir profion gan Dduw yn annibynol ar yr oll a ddywedir o blaid nac yn erbyn "Joe Smith," a phob dyn arall. Wel, a ofynir ymresymiad tecach na hwn? A oes modd cael ffordd sicrach neu rwyddach?

Paham gwrthod y cynnygiad teg hwn, ynte? Etto meddwn, os na phrofa Duw mai llyfr dwyfol yw Llyfr Mormon, wedi y gwneler prawf o hono, peidier byth a'i gredu o'n rhan ni; ac o'r ochr arall, wedi y profa Duw ef yn wir. Pa wiw, pa waeth, fod holl fleiddiaid y byd yn hyll floeddio mai celwydd yw.

Ystyriwn hyn yn cloi y pwnc i fyny o'n hochr ni dan gloion dwyfol a thragwyddol, ac yn dangos anonestrwydd a ffolineb yr hwn a ddadleua yn erbyn cynnygiad mor *deg a didwyll a hwn heb ei brofi.*

Traddodwyd Darlith yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, nos Ferchcr, y 10ed o'r un mis, pan yr adolygwyd Darlith Mr. Roberts, yn y Capel Isaf, (Bedyddwyr), Merthyr. Yr oedd y Neuadd yn orlawn o wrandawwyr boneddigaidd ac astud. Profwyd yno fod Mr. R. wedi dwyn yn mlaen mewn un araeth dros ddeg ar hugain o gamgyhuddiadau yn erbyn y Mormoniaid a'u crefydd, ac amddiffynwyd, nid gyda haeriadau disail fel eiddo ein herlidiwr, ond ag *ysgrythyrau, ffeithiau, a hanesion gwirioneddol, a diwrthbrawf.* Yr oedd yn amlwg oddiwrth sirioldeb ac astudrwydd y gwrandawwyr ar y pryd, ynghyd a phob tystiolaeth a ddaeth i'n clustiau er hyny; fod ein gwrandawwyr yn caru y *gwirionedd*, ac yn ffieiddio ymosodiadau enllibus, gwaradwyddus, a diachos ein herlidwyr arnom oherwydd ein crefydd. Ffaith nodedig arall a brofa fod yr erlidwyr hyn yn gwneyd lles i'r gwir o'u hanfodd yw, fod ein Neuadd yn llawnach o wrandawwyr nac erioed, ïe, bob Sabboth er hyny y mae yn orlawn. Ac yn mhellach etto, dywedwn fod genym ffeithiau gwell etto i brofi fod pob peth, a *hyn hefyd* yn cydweithio er daioni, sef, Bedyddiasom 10 yn Merthyr yn yr wythnos hono ag y bu efe yn darlithio, ac amryw, fwy neu lai bob wythnos er hyny hyd yn awr. Ie, ac y mae y cynnydd yn parhau, a'r gobeithion yn cynnyddu, a'r Saint yn llawen fwynhau bendithion a doniau dwyfol fwy fwy drwy y cwbl. Ac nid mewn dim arall braidd y dangosa ein herlidwyr eu dallineb a'u ffolineb yn fwy nac drwgfeddwl y gallant ddiddymu Mormoniaeth o'r wlad! Profa hyn nas gwyddant beth y maent yn ei wneuthur. Profa eu hanwybodaeth o honi, ac o ganlyniad eu hanaddasrwydd i'w gwrthwynebu. Etto, meddwn wrthynt oll yn un, gyfeillion, "*you have come to the wrong pew.*"

"DARLITH AR FORMONIAETH."

Wedi ysgrifenu yr uchod daeth y *Seren Gomer* am fis Rhagfyr i'n llaw, ac ynddi ysgrif dan yr enw uchod, o waith rhyw Dafydd Lewis, Merthyr, yn hôni rhoddi hanes am y cyfarfod rhag-grybwylledig; a dyfynwn yr hyn a ganlyn o hono yn enghreifftiau i brofi yr hyn a ddywedasom eisoes, sef yr anmhosiblrwydd i gael *hanes, desgrifiad*, na braidd *frawddeg* wirioneddol o enwau nac ysgrifellau ein herlidwyr; a gwel pob un a wyr y ddwy ochr y rhaid fod y Dafydd Lewis hwn fel y y lleill wedi hir ymarferyd a gwau celwyddau gwirfoddol yn rheffyn cyn y meiddiasai ysgrifenu y fath dusen anwireddus i'r *Seren Gomer;* ai fod yn hollol ddigymmeriad am wirionedd cyn y rhoddai ei enw wrth y fath ysgrif yn ngwyneb y cannoedd lawer oddeutu Merthyr a Dowlais, ac hyd i "Fristol hefyd," pa rai a wyddant trwy brofiad nad oes yn ei ysgrif oll braidd argoel o wirionedd i'w gael! Beth a feddylia y tor-

feydd lliosog a pharchus sydd yn ymgasglu i wrando y Mormoniaid yn Dowlais yn gysson, wrth yr hyn a ganlyn ?—" Ni fuasem yn gwneyd sylw mor gyhoeddus o'r fath gyfeiliornad amlwg yn Merthyr, oni fuasai y llwyddiant a'r daioni (*alias* yr aflwyddiant a'r drygioni i'w crefft hwy) a ddilynodd darlithiau ein parchus (?) frawd ar yr un pwnc yn Nowlais, rai wythnosau yn ol. Effeithiodd ei ffeithiau cedyrn [chwedlau gweiniaid a gwarthus]—ei hanes fanwl [ond unochrog hollol]—a'i resymau [haeriadau] anatebadwy [pa rai a atebwyd oll yn effeithiol yn yr *Adolygiad*, yr hwn a feddai yr hanes ar y pryd, heblaw drwy amryw ddarlithoedd, nes y maent yn ddiareb a gwarth] i oleuo pobl Dowlais. [do eu goleuo i weled twyllresymau ffol y darlithydd yn eglur], fel y mae rhai o'r Mormoniaid wedi gadael y *system* dwyllodrus, (naddo meddwn, ni lwyddasant i gael gan gymmaint ag un adael y Saint drwy'r holl *grusade* gwarthus yn eu herbyn ; ac os nad gwir a ddywedwn, cyhoedder eu henwau i'r byd fel y gweler pwy a pha nifer y'nt, canys cyhoeddasom o'r blaen nad oes un wedi eu gadael yn Dowlais wedyn, ac y mae y bachgen truan a gyflogasant i'n herlid a'i holl galon yn edifarhau am hyny ; na thebyg y gadawa neb, ond cadarnhawyd hwy yn yr athrawiaeth fwy nag erioed. Prophwydodd hen brophwyd Caersalem mai felly y byddai, mae'n wir, a chyhoeddodd hyny heb sill o wirionedd ynddo ; ond y mae mor sicr a hyny mai hollol groes y mae y gwir ; a'r neb a amheua a alla gael ffeithiau i brofi nad oes braidd wythnos wedi myned heibio er hyny ar na fedyddiwyd mwy neu lai gan y Saint, ïe, yn *Dowlais*, yr hyn a ychwanega at y lluaws o ffeithiau a feddid eisoes i brofi mai gau-brophwyd yw ein hen erlidiwr creulon o Dowlais, a'i ddyscyblion hefyd, pa rai a glebrant hyn ar ei ol, fel y *parots* yn dynwared eu gilydd. Beth na ddyweda y rhai sydd mor rhyfygus a chyhoeddi hyn yn ngwyneb y cyhoedd a goleu dydd ? Mai "ychydig" yw y Saint yn Dowlais, ac yn "watwargerdd" sydd mor anwireddus a'r gweddill o'i haeriadau, fel y gwelir yn ddiwrthbrawf wrth ein cyfrifon a geir yn hanes Cymmanfa Morganwg yn *Seren y Saint* am Ionawr, 1843. Ac yma cywilyddied y Dafydd Lewis hwn, os oes cywilydd ynddo ! Dyfyniad arall a arddengys falais ac anhegwch yr hanesydd sydd fel y canlyn :—" Wedi i Mr. Roberts draddodi y pethau hyn yn Nowlais, ysgrifenodd un o'r Mormoniaid, beth a *elwir* yn Adolygiad ar ei ddarlithiau ; cododd Mr. R. y *patchwork* gwrthyn hwn i sylw y gynnulleidfa barchus ag oedd ger ei fron gyda deheurwydd neilldual (gweler ei ddeheurwydd arferol yn nechreu y traethawd hwn ! dim ond y *ddwy* enghraifft a nodasom o gwbl ! ! Dyma ddull y dynion hyn, sef cyhoeddi *anathemau* gydag *anffaeledigrwydd* uwchben pawb a phobpeth na allant wrthbrofi ! felly yma, fel y profa yr *Adolygiad* drosto ei hun i bob gonest ei egwyddor. Paham na adawsent i'r cyhoedd ddewis eu barn eu hunain, yn enwedig gan yr haerant mai chwareu teg i'r genedl yw eu dyben ?) gan ddangos gwendid y *system* (pa fodd, Syr ? Beth, a brofodd ? naddo ddim un *prawf*, ond ei haeriadau haerllug a disail) nad oedd ganddi gryfach amddiffyniad i'w haeriadau nag oedd yn y llyfryn dwl ac idiotaidd hwnw." Ie, dyma hi etto, yr hen rigwm haeriadol a dibrawf fyth. Cynnwysa y llyfryn hwnw wrthbrofion rhy gedyrn i Mr. R. eu gwrthbrofi, na neb o'i *ddupes*, ond chwiliant yn ddiwyd serch hyny am y brawddegau mwyaf blagardaidd i ddiystyru a chondemnio yr hyn ni allant wrthbrofi. Os y cyfryw yw y llyfryn, mwy rhesymol fuasai i'r dynion annog pobl i'w

ddarllen; fel y gwelent beth yw yn lle dangos euogrwydd eu cydwybod drwy eu hofnau i neb ei ddarllen. Ond, nid ofnwn eu dedfryd, gan fod yr *Adolygiad* hyd y wlad yn tystio trosto ei hun, nes ag yr addefa hyd y nod y *Bedyddwyr* gonest ei fod yn *home stroke* i'w darlithoedd, na wellant byth o hono. Daeth un o bregethwyr parchus y Bedyddwyr yn y cylchoedd hyn atom yn bwrpasol i gael ei fedyddio genym yn fuan wedyn, gan addef ddarfod i'r Adolygiad ei argyhoeddi yn drwyadl o dwyll a drygioni pregethwyr y Bedyddwyr, ac o wirionedd Mormoniaeth! Bedyddiasom amryw o'u diaconiaid hefyd, ac aelodau, a daw ychwaneg etto yn fuan. Enghraifft arall o'i haerllugrwydd gwarthus yw yr hyn a ganlyn:—"Dywedai Mr. R. yn groew ar gyhoedd, y gadawai ef y ffeithiau (?) hanesyddol oedd ganddo er profi twyll Mormoniaeth yn gwbl o'r neilldu, ac yr anturiai ar dir y BEIBL Mormonaidd *yn unig*, (do dywedodd hyny! pa faint nes oeddym i gael y gwir er hyny? Yr un peth fuasai iddo haeru y gallasai efe newid y lleuad! Yr ydym wedi profi drosodd a thrachefn mai yr un yw ein "Beibl" ni ag a broffesa yr holl gristionogion ei gredu. Nid oes genym *feibl* arall; a gwyr y dynion hyn o'r goreu, ac er y cwbl "*Beibl Mormonaidd*" yw eu ffregod o hyd! Yn enw rheswm pa bryd y ceir terfyn ar y fath haeriadau enllibus ac addunedau, a dechreu cyflawni rhai o honynt bellach? Etto meddwn, y *Beibl cysegrlan* yw *Beibl* y Mormoniaid hefyd, craffer y tro hwn ynte!!! a pha reswm haeru yn groes o hyd, pwy a wyr oreu? Ein gelynion fyth a'n henllibant ac a'n gwawdiant am hyny! (gan brofi o hwnw (ebe efe) mai *forgery* noeth ydyw." Haerodd yn Dowlais mai *forgery* o'r "*Spaulding Romance*" ydoedd, ond cofier iddo brofi yn groes i hyny yn Merthyr yn hollol! os *Llyfr Mormon* a eilw efe yn Beibl Mormonaidd. Heriwn ninnau ef i gyflawni yr haeriad hwn ychwaith, ac hyd nes y gwnelo hyny nid oes ganddo hawl i grediniaeth un dyn geirwir, canys gormod gorchwyl yw iddo ef na neb arall brofi Llyfr Mormon yn gyfryw, oddieithr iddo ei wyrdroi a dyfynu o hono yr hyn nid oes ynddo, fel y gwnaeth yn Dowlais yn gywilyddus, gwel *Adolygiad;* "ond am eu *haeriadau*, gormod gwaith i un meddyg Mormonaidd yw eu gwella o'u clwyfau yn ardaloedd Merthyr a Dowlais byth mwy." Mae hyn hefyd yn anwiredd gwybodus i Mr. Lewis, neu gallai wybod wrth y torfeydd lluosocach nac erioed a ddeuant i'w gwrando bob sul yn ei ymyl er hyny, fod ein cynnydd yn fwy nac erioed, ac os amheua (yr hyn ni alla yn ei galon) deued tua Neuadd y Cymreigyddion ar nos Sul, ac os galla gael lle i eistedd, rhaid iddo ymddarostwng ei chwydd mawr i gwmpas llai nac y teimla ei hun yn awr. Etto, ebe efe, ac yn rhwym o fod dan frathiadau cydwybod euog, "gobeithiwn y daw y llyfryn hwnw allan cyn i'r Saint ddiffoddi yn llwyr y ffordd hon, (daw Syr, peidiwch ac ofni; os daw byth daw cyn i'r Saint ddiffoddi yma, yn ol yr argoelion a geir, er hyny o fedyddio deg yn yr wythnos, a mwy neu lai bob wythnos, a sicrhawn fod eglwys y Saint yn Merthyr, yn lluosocach er y cwbl nac un eglwys a berthyn i un enwad yn Merthyr, a chaniatawn eu rhif hwy eu hunain! A ydych yn barod i rifo, neu i dewi a'ch "ychydig" llai, lleiaf, &c., o hyd? Gwnewch y naill neu y llall bellach rhag cywilydd! Mae i ninnau hawl i brophwydo tipyn am Formoniaeth bellach, bid siwr, gan fod pob crach-olygydd a chrach-bregethwr, a chrach-shiopwr, a chrach-erlidiwr, yn treio eu talent ati; a dyma yw, prophwydwn mai gwaith ofer yw cyfansoddi ei "Marwnadau,"

a pharotoi ei "phregethau angladdol," ac na bydd byth eu heisiau; ac amser a ddengys yn amlycach etto mai *gau-brophwydi* yw yr holl rai sydd yn darogan adfeiliad a marwolaeth Mormoniaeth mor sicred a'i bod hi yn llawn o "nerth bywyd anherfynol." Bydd galwad am bregethau angladdol Mr. Davies o Ddowlais, Roberts o Rymny, Dafydd Lewis, a Golygydd y *Seren Gomer*, ynghyd a'i holl erlidwyr, cyn y bydd hi farw; ïe, cyn y bydd un argoel ei bod hi yn glaf ychwaith! Sylwer pwy a brofir yn au-brophwydi, ynte; wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. Dyma ein prophwydoliaeth ni! Dyfynasom eisoes fwy o'r ysgrif warthus hon nac a feddyliasem ar y dechreu am wneyd; ond er hyny goddefer i ni ddwyn yn mlaen yr hyn a ganlyn etto er lliwio y darlun yn iawn; canys, meddylied yr ysgrifenydd hwn yn ddiffigiol i'r holl grach-ysgrifenwyr, a'r Golygyddion ereill braidd a'n triniant, oddieithr iddo gofio rhoi yr enwau boneddigaidd, efengylaidd, a charedig a ganlyna arnom; sef—"A chydfarnai *pawb!* (Pawb, aie, pa fodd y gwyddech hyn, Syr, oddieithr eich bod yn hollwybodol? O na, hollol groes oedd y peth; canys yn nghanol y dorf wrth ddyfod o'r cwrdd hwnw yr holl a glywem hyd yr heolydd oedd dynion a benywod yn adrodd eu syndod a'u siomedigaeth fawr o fod un dyn mor ddwl ac adrodd y fath chwedlau afresymol uwchben ei gyd-ddynion am wirionedd, pan yr oedd y naill beth yn croesi y llall o hyd. Pe buasai yr hanesydd gyda ni clywsai yr areithydd yn cael ei wfftio a'i gymeni yn waeth nac y clywsom un areithydd yn cael ei drafod erioed. "Wel, wel, dyna'r dwla oll, yn lle gwrthbrofi eu hegwyddorion o'r ysgrythyrau, ni chynygiodd un ysgrythyr o gwbl," (ebe y bobl o'n deutu ni) "o na (ebe arall) gwyddai well na chynnyg ysgrythyr, na dim ond hen chwedlau gelynion i wrthbrofi crefydd ein cymydogion!" ond cyd-farnai pawb, gydag Iorwerth (ebe efe) y gellid yn rhwydd restru y "Seintiau" twylledig gyda'r *witches*, (eithr nid ellid eu rhestru gyda y *defaulters*, serch hyny?) a'r *fortune tellers*, a llefaru uwch eu pen hwynt, a'u Mormoniaeth yn iaith Twm o'r Nant, &c." Ie, ddarllenydd, dyma y *finishing stroke* etto fel arferol, condemnio eu cymydogion crefyddol am *witches, fortune tellers, &c.*, yn hollol ddibrawf, a phan amddiffynwn, bloeddiant *blagardiaeth, celwydd, &c.* Pwy mor ddall a'r na wel eu dichell a'u cenfigen at y gwirionedd? Oes y mae cannoedd yn mhob cwr yn agoryd eu llygaid bob blwyddyn, ac hyd y nod o blith dyscyblion ein herlidwyr y mae amryw gannoedd wedi ymuno a Mormoniaeth yn Nghymru eleni. Braidd bob dydd clywwn amrai o'r Bedyddwyr, ïe, rhai o eu *pregethwyr* a'u *diaconiaid*, yn nesu yn mlaen i glywed yr ochr arall i'r hyn a erlidir gymmaint gan eu bugeiliaid, yn gwrando—yn credu, ac yn cael eu bedyddio gyda y Saint, a'r rhai a welsom hyd yn hyn yn diolch i Dduw ddarfod i'w sylw gael ei dynu at Formoniaeth drwy erledigaeth, a thystiant na chymmerent mor byd am y cyfnewidiad er gwell. Tra yn ysgrifenu y linell olaf, hysbyswyd ni am un o'r Bedyddwyr, ac yn wraig i un o ryfelwyr a fedyddiwyd ddoe gerllaw i yma. Dyma effeithiau y darlithio mawr i'n herbyn, a goreu po fwyaf o hono o'n rhan ni; ewch yn mlaen erlidwyr, ac ymwrolwch, canys yr ydym ni a'n crefydd uwchben eich sawyr. Lles a wnewch i'n crefydd ni gwnewch chwi a fynoch. Ni allwch ei niweidio na'i rhwystro, ac nid yw yr oll a allwch wneyd neu ddweyd yn ddigon i rwystro carwyr y gwirionedd i'w ei gofleidio. Dim diolch i chwi serch hyny. Pwy na thosturiai wrth sefyllfa lygredig ein

gwlad, gan mai rhyw sothach anwireddus a gwarthus fel hyn sydd yn llanw colofnau eu cyhoeddiadau a broffesant fod yn grefyddol! Ie, dyma y bwyd iachus a bortha y rhai a alwant eu hunain yn "fugeiliaid y wlad," "athrawon y bobl, &c." ie, dyma iaith, chwaeth, a rhesymau y rhai a honant fod yn "Efangylwyr Parchedig," a "duwiol-frydig" yr oes oleu hon!! Dyma enghreifftiau o honynt gan mwyaf ffordd hyn, yn enwedig yn mhlith y *Bedyddwyr!!* Hawyr bach! Beth fyddai sefyllfa echryslon ein gwlad pe caffai y rhai hyn ffrwynau y llywodraeth? Byddai yn ddiwedd byd yn ddiau ar y *Seintiau*, a phawb nad ymostyngent i'w *ibsi dixit* hwynt. Brenin y Saint a roddo yr amenau yn llaw y *chwillys* etto, yn hytrach nac o fewn cyrhaedd crafangau y Bedyddwyr creulon ac erlidgar hyn.

CRUSADE ROBERTS O RYMNY YN NINBYCH ETTO!

Ysgrifena Henuriad A. Evans, o Ddinbych, fod y gwr uchod yn traddodi yr un hanes anwireddus yno ag yn Dowlais, ar y Mormoniaid druain, ar y 29ain o Tachwedd. Dechreuodd ei ddarlith fel y canlyn:—"Nid hoff genyf y gwaith hwn [sef o "gomplimentio y Diawl!"] ond da fuasai genyf pe buasai yma un yn ddigon galluog i'm gwrthsefyll ar y pwnc hwn (ebe efe wedi cyrhaedd dros gant o filldiroedd oddiwrth ei hamddiffynwyr debygasai efe!) Ysgrifenodd arolygwr y Mormoniaid dros Gymru, *Adolygiad* ar y ddarlith hon, (ebe efe) ond nid yw hwnw yn werth un ateb ond ei adael dan sylw, am nad yw yn cyffwrdd dim a mi, &c." Aie, Syr! Dim yn cyffwrdd a chwi, aie? O, ydyw y mae yn gosod y gorden am eich gwddf, neu yn hytrach yn dangos fel y rhoddwch eich pen yn y gorden eich hun, ac fel y windiwch eich hun i ben eich crogbren eich hun; ac yno dalia chwi yn grogiedig ger gwydd pob dyn gonest, serch i chwi waeddi, Pw-pw, islaw sylw, &c. Pa grwt ar na alla waeddi hyna cystal a chwithau, ie, gellir dysgu hyny i *barrot*, ac adroddai mor bert a chwithau. Druan o honoch, os yw yr hyn a'ch fflangella mor llym ag y gwna yr *Adolygiad* cyfeiriedig, "islaw eich sylw." Gato pawb, beth a deilynga eich sylw, wyddis! Efallai bod y sêr a'r planedau dan eich traed chwi hefyd fel pethau *is-sylw*. Os na theilynga hwn eich sylw; ymdrechwn ddwyn eich sylw at y peth nesaf, os gwnewch eich hun yn destun sylw byth etto. Uchel iawn eich trem yn siwr! Rhyfedd iawn fod peth mor wael a Mormoniaeth wedi tynu cymmaint o'ch sylw! Tebyg na ddychymygasoch ei bod hi yn ddraenog, mor bigog, nac y gallai amddiffyn ei hun, ond cofiwch, y mae hi heb ymysgwyd o'i gwisg etto.

Hysbysa A. Evans ddarfod iddo ef ofyn caniatad ar gyhoedd, ar ol i'r areithydd ddiweddu, "a gaffai efe genad i gyhoeddi ei fod ef yn amcanu gwrthbrofi y ddarlith hono allan ar yr heol yn y fan." Mewn atebiad i'r hyn gwaeddai y gweinidog, anheg, "na chewch, na chewch." Dim diolch iddo, canys yr oedd y cyhoeddiad yn y cwestiwn. Yna coffhaodd A. Evans yr areithydd o'i feiddiad ar y dechreu i'w wrthwynebu ef ar y pwnc, a dywedai ei fod ef yn barod i wneyd y gymwynas hawdd hono iddo ar y pryd, os caniatai efe. Ar hyn gwelodd ei drap, a meddyliodd mai yr unig dwll a allai ddianc iddo oedd gwaeddi, blagardiaeth, is ei sylw, &c. Ac yn lle gadael i'r dyn amddiffyn ei grefydd ar ol ei faeddio i wneyd hyny dechreuodd y Parch. E. Roberts, o Rymny, Baalam y Sectariaid: ie, bygythiodd fyned ac

A. Evans i *lodgings* yn y carchar, os ynganai air!!! Ni ddysgwyliasom ddim gwell ganddo ychwaith, oherwydd gwelsom gynnifer o rai cyffelyb iddo gyda'r un gorchwyl parchus, o erlid plant Duw yn gwneyd yn gyffelyb, a gwyddom nad oes ynddo yntau un sugndod at wirionedd, onide ni thraethasai ei sothach aflan mor belled, tra y gwyddai mai y cyfryw oeddynt cyn cychwyn. Yr oedd hyn yn gyfle pert i ddangos ei hun, bid siwr, i'w hen gymydogion, ac yn ffurfio testun ymffrost; "y fath ddadleuwr yw Mr. Roberts, &c." Ond, Syr, yn eich awydd am hunan-glod, anghofiasoch daledigaeth y wobrwy ag sydd yn eich haros; a'r hyn a'ch goddiwedda fel ffrwd-lifeiriant, pan y byddoch wedi gorphen gwneyd Mormoniaid, ac wedi cyflawni mesur eich hanwiredd. Daeth yr holl bobl ac ychwaneg nac oedd yn gwrando y ddarlith i wrando ar A. Evans yn gwrthbrofi ei gamgyhuddiadau, a syndod mawr oedd gan y mwyrif o lawer fod un dyn, hyd y nod Roberts ei hun mor ffol a thraethu y fath chwedlau yn gyhoeddus. Sicrha A. Evans ddarfod i'r ddarlith wneyd lles mawr i Formoniaeth, ei fod ef wedi bedyddio un dranoeth a fuasai gyda y Bedyddwyr am dros dri ugain mlynedd! ac addawodd amryw ereill ufyddhau yn fuan. Mae pob peth yn cydweithio er daioni, gweler. Weithian cyflwynwn y gwirioneddau amddiffyniadol hyn i sylw ein darllenwyr, a gweddiwn ar i'n Duw ei bendithio er dwyn llawer i gofleidio y gwir fel y mae yn yr Iesu. Amen.

---

ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES, RHYDYBONT.

